Information Commissioner's Office
Swyddfa'r Comisiynydd Gwybodaeth

# Adroddiad Blynyddol ar y Gymraeg
Ebrill 2018 i Fawrth 2019

## Rhagymadrodd

Swyddfa'r Comisiynydd Gwybodaeth (ICO) yw swyddfa rheoleiddiwr y ddeddfwriaeth ar hawliau gwybodaeth yn y Deyrnas Unedig, ac mae hi o dan nifer o rwymedigaethau cyfreithiol o ran y Gymraeg. Nodir y rhain yn llawn yn hysbysiad cydymffurfio Safonau'r Gymraeg.

Un o'r gofynion hyn yw cyhoeddi adroddiad blynyddol sy'n manylu ar y camau a gymerwyd o ran cydymffurfio â'r safonau uchod. Mae'r adroddiad hwn yn ymdrin â'r cyfnod o Ebrill 2018 hyd at Fawrth 2019.

Yn ystod cyfnod yr adroddiad hwn, parhaodd yr ICO i weld galw ar ei gwasanaethau a'i hadnoddau a oedd heb ei weld o'r blaen. Y prif reswm am hyn oedd proffil uwch hawliau gwybodaeth yn y cyfnod cyn ac ar ôl gweithredu'r Rheoliad Cyffredinol ar Ddiogelu Data (GDPR) a Deddf Diogelu Data 2018, ym mis Mai 2018.

## Y cefndir

Mae'r ICO yn rheoleiddiwr i'r Deyrnas Unedig gyfan, gan ymdrin â Chymru, Lloegr, yr Alban a Gogledd Iwerddon. Prif swyddogaeth swyddfa ranbarthol Cymru yw sicrhau bod materion sy'n benodol i Gymru yn cael eu hadlewyrchu'n briodol yng ngwaith y sefydliad ehangach, ond mae swyddfa Cymru hefyd yn gyfrifol am ddarparu gwasanaethau Cymraeg i randdeiliaid Cymraeg eu hiaith yng Nghymru.

## Y camau a gymerwyd

Drwy gydol y flwyddyn, rydym wedi parhau i ddarparu gwasanaethau yn Gymraeg i randdeiliaid Cymraeg eu hiaith. Er gwaethaf y galw am wasanaethau a grybwyllwyd uchod, rydym yn falch o nodi ein bod wedi parhau i gael llif o adborth cadarnhaol o ran ein darpariaeth Gymraeg. Mae hyn yn adlewyrchu ymrwymiad parhaus yr ICO i ymwneud â'r rhanddeiliaid yn Gymraeg.

Gwelir isod rai o'r camau allweddol a gymerwyd rhwng mis Ebrill 2018 a mis Mawrth 2019:

- Rhoddwyd ffurflen electronig Gymraeg ar waith i alluogi siaradwyr Cymraeg i gofrestru eu cwynion ynglŷn â galwyr niwsans

- Rhoddwyd gweithdy dwyieithog ar ran un o'n rhanddeiliaid

- Cyflwynwyd laniardiau i adnabod y staff sy’n siarad Cymraeg neu’n dysgu

- Ysgrifennwyd erthygl ar gyfer y cylchgrawn staff, i godi ymwybyddiaeth o'r Gymraeg a'n rhwymedigaethau o dan y ddeddfwriaeth

- Dechreuwyd defnyddio gwasanaeth neges llais dros y ffôn yn gwbl ddwyieithog i’r rhai sy’n ffonio Swyddfa’r ICO yng Nghymru

- Cyflwynwyd “Dydd Gwener Cymraeg”, sef cyfnod gosod yn amser y staff i’r rhai sy’n siarad ac yn dysgu Cymraeg ymarfer eu sgiliau a sgwrsio yn Gymraeg.

- Dechreuwyd gwaith i ddatblygu porth recriwtio dwyieithog ar-lein i'w ddefnyddio wrth recriwtio staff i swyddi yng Nghymru

**Ymholiadau**

Yn ystod y flwyddyn, cafodd yr ICO 312 o ymholiadau yn Gymraeg, sef 11% o’r holl ymholiadau a drafodwyd gan swyddfa’r ICO yng Nghymru. Mae’r ymholiadau hyn yn ymrannu’n 47 drwy’r e-bost, dau drwy lythyr a 263 o ymholiadau ffôn. Yn Gymraeg yr ymatebwyd i bob un o’r ymholiadau hyn.

**Gwaith achosion**

Proseswyd 10 o achosion rhyddid gwybodaeth yn Gymraeg, a chynhaliwyd pedwar asesiad diogelu data.

**Cwynion**

Ni chawsom yr un gŵyn ynglŷn â chydymffurfio â safonau’r Gymraeg.

Er hynny, ym mis Mawrth 2019, fe wrthododd Tribiwnlys y Gymraeg apêl yr ICO yn erbyn penderfyniad gan Gomisiynydd y Gymraeg a ddeilliodd o gŵyn a wnaed i Gomisiynydd y Gymraeg yn 2017. Adeg ysgrifennu'r adroddiad hwn, rydym yn dal i weithio ochr yn ochr â Chomisiynydd y Gymraeg i ddatblygu mesurau pragmatig mewn ymateb i benderfyniad y Tribiwnlys.

**Codi ymwybyddiaeth**

Parhaodd swyddfa ranbarthol Cymru i godi ymwybyddiaeth o’r Gymraeg gyda chydweithwyr ar draws y sefydliad. Disgrifir llawer o'r dulliau a ddefnyddiwyd i gyflawni hyn yn yr adran 'Camau a gymerwyd' yn gynharach yn yr adroddiad hwn.

Rydym hefyd yn tynnu sylw at ein rhwymedigaethau o ran y Gymraeg mewn cyfarfodydd â chydweithwyr a rhanddeiliaid, a hefyd drwy gyflwyniadau

wyneb yn wyneb mewn briffiadau ymsefydlu corfforaethol i staff newydd. Yn ogystal â helpu i gynyddu ymwybyddiaeth ym mhob rhan o'r sefydliad, mae hyn wedi peri i adrannau ystyried y Gymraeg wrth ddatblygu gweithdrefnau newydd.

## Hyfforddiant

Mae’r ICO yn dal i annog ac i baratoi’r staff i allu ymdrin â rhanddeiliaid yn Gymraeg drwy gydol eu taith drwy’r gwasanaeth. Bob blwyddyn, mae pob aelod o’r staff yng Nghymru yn cael cyfle i ddatblygu eu sgiliau Cymraeg os ydyn nhw’n dymuno gwneud hynny, a hynny gyda chymorth gan yr ICO.

Eleni ariannwyd nifer o weithgareddau dysgu i’r staff gan gynnwys presenoldeb un aelod mewn bŵt-camp Cymraeg am wythnos i ategu gwaith dysgu ffurfiol yr aelod. Cytunwyd hefyd i ariannu rhaglen ddysgu ar-lein am chwe mis i aelod arall.

## Asesiad o sgiliau’r staff

Mae gan swyddfa ranbarthol Cymru ddau aelod staff sydd â medrau Cymraeg llafar rhagorol. Anogir y ddau aelod hyn i ymateb yn Gymraeg i ymholiadau ysgrifenedig neu ymholiadau ebost yn Gymraeg lle maen nhw’n teimlo'n ddigon hyderus i wneud hynny heb droi at gyfieithydd proffesiynol. Y nod yn hyn o beth yw datblygu sgiliau ysgrifenedig mewnol.

Mae gan un aelod o’r staff fedrau lefel Mynediad 1, ac mae holl staff Swyddfa Cymru’n gallu ateb y ffôn yn ddwyieithog. Er hynny, does dim modd i’r holl staff ateb y ffôn yn unol â safbwynt Comisiynydd y Gymraeg ynglŷn â safon 11.

## Recriwtio

Ni chafodd unrhyw staff newydd eu recriwtio i swyddfa’r ICO yng Nghymru yn 2018-2019.

## Cyfieithu

Yn ystod cyfnod yr adroddiad hwn, cafodd £7212.35 ei wario ar gyfieithu dogfennau. Dyna gynnydd o £213.36 ar y flwyddyn cynt.

Cafodd cyfanswm o 68 o ddogfennau eu cyfieithu, rhai yn fewnol, gan gynnwys gohebiaeth gwaith achosion, hysbysiadau i’r wasg, llythyrau at siaradwyr Cymraeg a’n hysbysiad preifatrwydd. Staff yr ICO yng Nghymru a gyfieithodd ddeuddeg o’r dogfennau hyn.

## Camau sydd ar y gweill

Ar gyfer y cyfnod Ebrill 2019 i Fawrth 2020, bydd yr ICO yn parhau i ddatblygu ei gwasanaethau Cymraeg.

Mae'r gwaith i ddatblygu rhyngwyneb Cymraeg gwefan yr ICO wedi dechrau cyn yr amser a drefnwyd yn wreiddiol, sef hydref 2019. Bydd y gwaith hwn, pan fydd wedi'i gwblhau, hefyd yn anelu at hwyluso cynnydd yn y deunyddiau Cymraeg sydd ar gael ar wefan yr ICO.

Byddwn yn parhau i bwyso a mesur cyfleoedd i lunio fersiynau Cymraeg o adnoddau i’r rhanddeiliaid sy'n cael eu datblygu ar hyn o bryd. Disgwylir i un set o leiaf o adnoddau sy'n cael eu datblygu ar hyn o bryd gael eu cyhoeddi'n ddwyieithog.

Byddwn yn parhau i asesu anghenion y staff o safbwynt hyfforddiant Cymraeg, ac rydym wedi ymrwymo i nodi cyrsiau a chyfleoedd dysgu er mwyn datblygu sgiliau’r staff ar bob lefel drwy gydol 2019. Rydym yn anelu at barhau i ddatblygu sgiliau Cymraeg llafar y staff, ac asesu hyfforddiant gan hoelio sylw ar ddefnyddio'r Gymraeg yn y gweithle.

Byddwn yn recriwtio i un swydd wag, sydd bellach wedi’i hailasesu fel un lle mae sgiliau Cymraeg llafar da yn un o’r meini prawf hanfodol, yn 2019. Bydd y broses recriwtio ar gael yn ddwyieithog.